9

# ALMANAC

Am y flwyddyn o oedran { y Byd 5637. / Crist 1688. }

(Yr hon sy flwyddyn naid,)

Yn Cynnwys Amryw o bethau newyddion na byant Argraphedig yn gymraeg erioed or blaen.

O wneuthuriad THOMAS JONES.

Y nawfed ARGRAPHIAD.

Licensed *Octob.* 11. 1687. *Robert Midgley.*


Argraphwyd 1687. Ac ar werth (dros yr Awdr) yng Haerludd.

Gan Mr. Lawrence Baskervile, tan Lun y Llew Côch yn yr Henadur Rewl.

Gan Mr. John Marsh, tan Lun y Llew Côch yn Rhewl Câth-fwytâad.

A Chan Mr. Charles Beard, tan Lun y trî Adar duon a'r fôr-forwyn yn Rhewl Watling.

Printed 1687. And are to be sold (for the Author) in *London.*

By Mr. *John Marsh* at the Red Lion in *Cateaton-street.*

By Mr. *Lawrence Baskervile* at the Red Lion in *Alder-manbury.*

And by Mr. *Charles Beard* in *Watling-street.*

# Y RHAG-YMADRODD.

Yr anwŷl Gymrŷ,

YR annheilynga o'ch gwaſanaethwŷr a ryſygodd yrru attoch unwaith mwŷ, i ddwŷn a'r ddeall i chwi mae bŷw etto iw 'r hwn a laddwŷd yn eich mŷſg fîl o weithiau er Calanmai diweddaf, am i'r haul dywynnu arnoch trwŷ 'r dŷdd hwnnw.

Os yſgrifennais attoch y byddeu diffyg ar yr haul, ar ddŷdd Calanmai, nid fi fyhun yn unig a yſgrifennodd hynnŷ: os edrychwch yn yr holl Almanaccau Saeſnaeg a yſgrifennwŷd am ŷr un flwŷddŷn, ni chewch weled un o honŷnt (ar a fyddeu arfer a 'ſgrifennu am ddeffygiadau) na bô ŷn darogan diffŷg ar yr haul yr un diwrnod, a'r un amſer o'r diwrnod ag i'r yſgrifennais inneu.

Hôll hên Awdwŷr ſywedyddiaeth (y rhain a ddyſgaſant y gelfyddŷd drwŷ fŷw chwech, ſaith, neu wŷth gant o flynyddoedd,) a gyttunnaſant a byddeu diffŷg ar yr haul pan ddigwŷddeu newid y lleuad o fewn ſaith neu lai o raddau i'r dehearig, neu'r gogleddig nodau, y rhain a elwir, Pen y ddraig, a chynffon y ddraig : Ac wrth y Rheol honno dylaſeu fôd diffŷg mawr ar yr haul ddŷdd Calanmai 1687. oblegŷd digwŷddodd newidiad y lleuad y dŷdd hwnnw o fewn llai nag un grâdd i ben y ddraig os gellir Coelio 'r *Ephemerides* a wnaed am y blynyddoedd hŷn.

Pa le (wrth hyn) y mae'r bai a wnaeth y ſâth gamgymmeriad a rhag-ddamwain diffŷg y prŷd na welwŷd dim oddiwrtho?

A ydiw'r bai ar yr hên Awdwŷr gŷnt, am iddynt gamſeilio 'r gelfyddŷd yn y dechreu? fe alleu na'd ydiw.

A ydiw'r bai ar y diweddarach Awdwŷr a gyfanſoddaſant yr *Ephemerides* am y blynyddoedd hyn? fe alleu na'd ydiw.

Onid ydiw'r bai ar yr un o'rhain, Rhaid iddo fôd ar yſ-

grifennyddion yr Almannaccau? fe alleu nad iw'r bai ar ysgrifennyddion yr Almannaccau chwaith!

Pa le ymteu y mae'r bai? ai ar siomigarwch Celfyddŷd sywedyddiaeth? os nid iw'r gelfyddŷd honno ond Twŷll ac ofer hudoliaeth na heuddeu mo'i 'styried, na'i chadw mewn Coffadwriaeth: Nid iw sywedyddiaeth yn ofer chwaith, nag etto yn gwbl dwŷllodrus, oblegŷd amriw bethau a ddigwŷddasant fel ag i'r rhag ddaroganwŷd hwŷnt drwy sywedyddiaeth, megis y mae yn hyspŷs iawn hynnŷ i drigolion y deŷrnas hon sy 'n fŷw 'r dŷdd heddiw.

Mae 'r ysgrythŷr Lân hefŷd yn Tystiolaethu fôd y sêr iw styried mewn fford sywedyddol, ac onid ê paham y mae *Debora* a *Barac* yn dywedŷd fôd y sêr yn eu graddau yn ymladd yn erbŷn *Sisera*; Barn-wŷr 5. 20.

Pa lê wrth hŷn y geill y bai fôd? rhaid iddo fôd yn rhŷwsan, agonid ê buasseu'r diffyg fel ag i'r ysgrifenwŷr y byddeu ef.

Er bôd deffygiadau yn dyfod drwŷ Annian Achlysurau neu wrth gwrs naturiaeth y planedau etto pan ddigwŷddont i maent yn rhag-ddangos rhŷw dramgwŷdd neu gyfnewidiad i rŷw fan a'i gilŷdd o'r Bŷd, naill ai yn y gwledŷdd lle bônt weledig, ai 'r gwledŷdd a fo dan Lyfodraethiad yr Arwŷddion lle a digwŷddont ynddŷnt.

Gwelwch fôd Crîst yn dywedŷd y byddeu Arwŷddion mawrion o'r nefoedd (ymhylith amriw ryfeddodau eraill) o flaen dinistr y Deml a dinas Jerusalem, Luc. 21. 11.

Drachefen o flaen y dŷdd diweddaf *bŷdd arwŷddion yn yr haul, a'r lleuad, a'r sêr, &c.* Luc. 21. 25.

Ac os i ragrybŷddio'r bobl o farnedigaethau Duw y mae'r fâth arwŷddion, neu'r deffygiadau yn dyfod, Duw weithieu (er gogoniant iddo ei hun) a oeda 'r fâth bethau, fel ag i mae ef yn dywedŷd, Esay 48. 9. *er mwŷn fy enw i oedaf fy llîd, ac er fy mawl yr ymmattaliaf oddiwrthit, rhag dy ddifetha.*

A phan wellâtho pobl eu buchodd, yr Arglwŷdd a drŷ yn ôl y gosbedigaeth a amcanasseu ef arnynt, fel ag i mae ef yn dywedŷd, Jeremi 18. 8, *os y genedl honno y dywedais yn*

*ei berbŷn, a drŷ oddiwrth ei drygioni, myfi a edifarhâf am y drŵg a amcenais ei wneuthur iddi.*

Pwŷ a eill ddywedŷd nad ydiw 'r hôll alluog dduw y prŷd ymma yn oedi Cospi rhŷw Deyrnas am eu beiau, ac na alwodd ef yn ôl arwyddion ei ddigofaint.

*Trwŷ ddwylaw Moses gwnaeth yr Arglwŷdd gynt i ryfeddodau bridio, Ecclesiasticus* 45. 3.

Pan welodd Duw yn ddâ estŷn einioes Hezeciah bymtheg o flynnyddoedd, efe a drôdd yr haul ddêg o raddau yn ei ôl, i arwŷddo i Hezeciah fôd yr Arglwŷdd yn chwanegu at ei ddŷddiau ef bymtheng mhylynedd, 2 *Brenhinoedd* 20. *Esay* 38. 8.

Onid oedd Cynhawsed i Dduw droi heibio ddiffŷg yr haul, a throi'r haul yn ei ôl?

Yr Hôll-alluog Dduw a wnaeth yr haul ar lleuad a'r planedau, ac a roes eu Cwrs, a'u naturiaeth iddynt, efe a eill pan fynno newid eu Cwrs, ac attal eu gyrfa wrth ei Ewŷllŷs a'i feddwl ei hun.

Nid eill sywedŷdd drwŷ reol ei gelfyddŷd ond datcan tueddiad y planedau wrth eu Cwrs a'u naturiaeth; ac nid ydŷnt yn Cymmerŷd arnŷnt mo ragddangos ewŷllŷs Duw fel ag i mae rhai (drwŷ gam gymerŷd) yn tybied eu bôd.

Ped faseu'r planedau y llynedd yn Cael eu Cyffredinol gwrs, baseu diffŷg ar yr haul fel ag i'r ysgrifennwŷd y byddeu, ond gan weled o Dduw yn ddâ ei droi heibio (drwŷ newidio Cwrs y planedau) gobeithio y Cyfeddwch fôd sywedyddion yn Esgusodus.

Os edrychwch etto dros yr ymadrodd a yrais attoch y llynedd ynghŷlch y diffŷg a ddisgwiliwŷd ar ddŷdd Calanmai, Cewch weled fy môd yn dywedŷd yno, onid oeddwn yn Camgŷmmerŷd y byddeu diffŷg dros yr haul, ac a byddeu dywŷllwch o'i herwŷdd êf.

Os Camgymerais unwaith, a ydiw hynnŷ yn ddi faddeuol; nid iw'r saethŷdd goreu mo'r gyfarwŷdd a tharo'r nôd ar bôb ergŷd.

Rwi 'n tybbied nad ellwch wadu na ysgrifennais Cŷn nesed i'r gwir ag odid o rai eraill er pan ddechreuais, yn enwedig

 wedig

wedig os ystyriwch yr hŷn a ysgrifennais yn fy Almanacc am y flwyddyn 1685, yn yr hon a digwŷddodd Cythryswl yn Scotland a gorllewin Lloegr.

I roedd 24. o ddalennau yn fy Almanacc am y llynedd, ac nid oedd ond un ddalen o honnŷnt yn sôn am y Deffygiadau os Cafodd y darllennydd y 23. dalennau eraill yn gywir (am ei dair Ceiniog) ni Chogied arno ef mor llawer.

Ped faseu'r diffŷg yn digwŷdd fel a disgwiliwyd, ni baseu raid ir bobl rwŷstro mo'u ffeiriau na'u marchnadoedd, na hel mo'u henifeiliaid i dai fel ag i mae 'r gair ddarfod iddŷnt mewn rhai mannau ynghymru: ni chynghores i monŷnt i wneuthur y fàth betheu.

Mae 'r Arglwŷdd yn dywedŷd wrthŷm, *nag ofnwch arwŷddion y nefoedd, Canŷs y Cenhedloedd a'u hofnant hwŷ Jeremi* 10. 2.

Er annedwŷdded wŷf o fethu vch bodloni, etto ni fedrai orffywŷs ond ymboeni i'ch gwasanaethu ymhellach: Ac nid wi'n ammeu (pan foch gydnabyddus am gwaith) na Chyseddwch ei fôd yn amgen gwasanaeth nag a wneuthum erddoch erioed o'r blaen: Yn y llythŷr at y darllennŷdd yn fy Almanacc am 1682. sôniais am y gwaith hwnnw yn y geiriau hŷn, *Dechreuais er ys blynyddoedd wneuthŷr llyfr Cymraeg i ddwŷn ar deall yn Eglur i bôb Cymro yr hŷn oll a ddarllenno yn ei Iaith ei hun, ag os rhŷdd Duw amser, a Chennad i mi iw orffen, Cewch ffordd hwylus ddidrafferth i ddeall yn hylaw bôb gair ar sŷdd ddieithrol i chwi yn y gymraeg.* Ac yr awron (i dduw 'bo'r diolch) galla ddywedŷd gael amser a Chennad gan yr Arglwŷdd iw orphen; Cewch helaethach hanes o hono yn niwedd yr Almanacc, hwn, ac o'r llyfrau eraill a Argraphwŷd dros

O'm Tŷ yn agos i Lun y Carwfil ym maes isa'r fywnog, Caerludd medi 21. 1687.

eich Gwasanaethwr

*THOMAS JONES.*

# *Yr Wyddor* Gymraeg.

A B C CH D DD E F FF G H I L LL
M N NG O P PH R S T TH U W Y

a b c ch d dd e f ff g h i l ll m n ng o
p ph r ſ t th u w y.

DI a weli fôd ſaith ar hugain o lythyrenau yn y *Gymraeg*: a ſaith o honynt a elwir, Bogeiliaid, y rhain ydynt; a e i o u w y.

A'r ugain eraill a elwir Cydſeiniaid, y rhain ydynt; b c ch d dd f ff g h l ll m n ng p ph r ſ t th.

Un o'r Bogeiliaid, ag un o'r Cydſeiniaid hyn a wna ſylaft fer;

megis

Ab eb ib ob ub wb yb.
ac ec ic oc uc wc yc.
ach ech ich och uch wch ych.
ad ed id od ud wd yd.
add edd idd odd udd wdd ydd.
af ef if of uf wf yf.
aff eff iff off uff wff yff.
ag eg ig og ug wg yg.
al el il ol ul wl yl.
all ell ill oll ull wll yll.
am em im om um wm ym.
an en in on un wn yn.

ang eng ing ong ung wng yng.
ap ep ip op up wp yp.
aph eph iph oph uph wph yph.
ar er ir or ur wr yr.
as es is os us ws ys.
ath eth ith oth uth wth yth.
aw ew iw ow uw yw.

Ba be bi bo bu bw by.
Ca ce ci co cu cw cy.
cha che chi cho chu chw chy.
Da de di do du dw dy.
dda dde ddi ddo ddw ddy.
Fa fe fi fo fu fw fy.
ffa ffe ffi ffo ffu ffw ffy.
Ga ge gi go gw gy.
Ia ie io iw.
La le li lo lu lw ly.
lla lle lli llo llu llw lly.
Ma me mi mo mu mw my.
Na ne ni no nu nw ny.
nga nge ngi ngo ngu ngw ngy.
Pa pe pi po pu pw py.
pha phe phi pho phu phw phy.
Ra re ri ro ru rw ry.
Sa ſe ſi ſo ſu ſw ſy.
Ta te ti to tu tw ty.
tha the thi tho thu thw thy.
Wa we wi wo wu wy.

Bydd hyddyſc ar yr hyn a eiſt droſdo, cyn y meiddiech ym mhellach; ac yno dŷſc gyſſylltu 'r llythyrennau yn ſylaſtau hwŷ, a geiriau cyflawn, ſel y canlyn.

*Geiriau o un Sylaſt.*

Am, bâs, bâr, cam, cap, car, câr, câs, câth, cî, cô, cû, dâ, dû, dûr, dwl, dŵr, dŷn, llâdd, llen, llô, llu, llw, llŷm, mam, mêr, môr, mûr, mŵg, myn, nâdd, nê, nôs, nudd, pam, pêth, pûr, pwn.

*Geiriau o ddwŷ Sylaſt.*

Ac-cen accen, ach-os achos, ad-re adre, add-ŷſc addŷſc, af-al afal, af-on afon, ang-or angor, an-os anos, aſ-en aſen, ba-bi babi, ba-chog bachog, ca-lon calon, ce-ſen ceſen, co-ffor coffor, cu-ro curo, cw-pan, cwpan, cy-bydd cybydd, da-ngos dangos, e-win ewin, do-len dolen, dûr-io dûrio, dw-yn dwyn.

*Geiriau o dair Sylaſt.*

Af-on-ŷdd afonŷdd, an-rhy-dedd anrhydedd, aſ en-au aſenau, at-eb-odd atebodd, ba-ſce-ded baſceded, be-rw-i berwi, ca-lon-au calonau, ce-rw-ŷn cerwŷn, co-rw-en corwen, da-io-ni daioni.

Geiriau

ang eng ing ong ung wng yng.
ap ep ip op up wp yp.
aph eph iph oph uph wph yph.
ar er ir or ur wr yr.
as es is os us ws ys.
ath eth ith oth uth wth yth.
aw ew iw ow uw yw.

Ba be bi bo bu bw by.
Ca ce ci co cu cw cy.
cha che chi cho chu chw chy.
Da de di do du dw dy.
dda dde ddi ddo ddu ddw ddy.
Fa fe fi fo fu fw fy.
ffa ffe ffi ffo ffu ffw ffy.
Ga ge gi go gw gy.
Ia ie io iw.
La le li lo lu lw ly.
lla lle lli llo llu llw lly.
Ma me mi mo mu mw my.
Na ne ni no nu nw ny.
nga nge ngi ngo ngu ngw ngy.
Pa pe pi po pu pw py.
pha phe phi pho phu phw phy.
Ra re ri ro ru rw ry.
Sa se si so su sw sy.
Ta te ti to tu tw ty.
tha the thi tho thu thw thy.
Wa we wi wo wu wy.



Bydd

Bydd hyddysc ar yr hyn a eist drosdo, cyn y meiddiech ym mhellach; ac yno dysc gyssylltu 'r llythyrennau yn sylaftau hwy, a geiriau cyflawn, fel y canlyn.

### Geiriau o un Sylaft.

Am, bâs, bâr, cam, cap, car, câr, câs, câth, cî, cô, cû, dâ, dû, dûr, dwl, dŵr, dŷn, llâdd, llen, llô, llu, llw, llŷm, mam, mêr, môr, mûr, mŵg, myn, nâdd, nê, nôs, nudd, pam, pêth, pûr, pwn.

### Geiriau o ddwy Sylaft.

Ac-cen accen, ach-os achos, ad-re adre, add-ysc addysc, af-al afal, af-on afon, ang-or angor, an-os anos, af-en afen, ba-bi babi, ba-chog bachog, ca-lon calon, ce-fen cefen, co-ffor coffor, cu-ro curo, cw-pan cwpan, cy-bydd cybydd, dan-gos dangos, e-win ewin, do-len dolen, dûr-io dûrio, dw-yn dwyn.

### Geiriau o dair Sylaft.

Af-on-ydd afonydd, an-rhy-dedd anrhydedd, af-en-au afenau, at-eb-odd atebodd, ba-sce-ded basceded, be-rw-i berwi, ca-lon-au calonau, ce-rw-yn cerwyn, co-rw-en corwen, da-io-ni daioni.

Geiriau

Remember to m the

*Geiriau o bedair Sylaft.*

Add-ol-i-aeth addoliaeth, add-e-wid-ion addewidion, co-lle-di-on colledion, gor-chym-myn-ion gorchymmynion, go-gon-edd-us gogoneddus, meddy gin-iaeth meddyginiaeth, me-ddi-an-ol meddianol, per-chen-no-gi perchennogi.

*Geiriau o bum Sylaft.*

Go-di-ne-brw-ŷdd godinebrwŷdd, ym-gy-foetho-gi ymgyfoethogi, ym-ry-ſo-nol-deb ymryſonoldeb, ym-ry-fu-ſe-ddu ymryfuſeddu, eth-ol-edig-ion etholedigion, go-ddi-we-ddi-ad goddiwedd-iad.

Gwŷbŷod mai ſylaft iw cymmaint o lythrennau ag a wnelo un ſŵn mewn gair, ſef, heb newid dy lais, megis, fel y gweli fôd yn y gair go-di-ne brw-ŷdd pump o ſylaftau, ac yn y gair ym-gy-foetho-gi y gweli fôd pum ſylaft.

Etto ith gyfarwŷddo; i ddarllen yn hytrach, pan gyfarfyddoech a nodau uwch ben y bogeiliaid, megis â ê î ô û ŵ ŷ, gwybydd mae rhaid iti yſtŷn y bogail yn hirllaes, megis hyn o eſamplau, yr aelwyd ſydd Tan y Tân. mewn man y gwelais adar mân. rhoſtio ber ar y bêr. mae yn fy mer aſgwrn mêr. rhowch halen ir Cîg Ir. gwneud gwelu ir Cor yn y Côr. Twr neu Swp, Tŵr neu Gaſtell. dal yn dyn yn erbyn dŷn.

*Englynnion*

# Englynnion ar ddyſgu darllen Cymraeg.

BOgeiliaid a gaid i'r gwŷdd, a'u gorchwŷl
Wna gyrchu gair Celfŷdd,
Cydſain gywrain yn Geurŷdd,
Llythrennau elfennau ſŷdd.

Os ti a flini heb flŷs i'r weithred,
Yr Athro a ddengŷs,
Dŷſg rwŷdd brif dâſg a rôdd brŷs,
Iw dealliad Ewyllŷs.

Cymmer waith ſwŷniaith i ſyned ymlaen,
Moliannus ŷw 'r weithred,
Rhag Cwŷmpo rhaid Croppio Crêd,
Cwŷn Cywirddoeth Cyn Cerdded.

Athrylith fendith yn ſwŷnder Enaid,
I ynnill uchelder
Trwſiodd ymmadrodd a'i meder,
I 'r Iaith bŷth Athrawiaeth bêr.

Dau

*Dau fâth o ffigurau rhifyddiaeth, a henw pôb rhîf ar ei gyfer yn gyflawn air*

| | | |
|---|---|---|
| I | 1 | Un. |
| II | 2 | dau. |
| III | 3 | trî. |
| IV | 4 | pedwar. |
| V | 5 | pump. |
| VI | 6 | chwech. |
| VII | 7 | ſaith. |
| VIII | 8 | wŷth. |
| IX | 9 | naw. |
| X | 10 | dêg. |
| XI | 11 | un ar ddeg. |
| XII | 12 | deu-ddeg. |
| XIII | 13 | tri ar ddeg. |
| XIV | 14 | pedwar ar ddeg. |
| XV | 15 | pymtheg. |
| XVI | 16 | un ar bymtheg. |
| XVII | 17 | dau ar bymtheg. |
| XVIII | 18 | trî ar bymtheg. |
| XIX | 19 | pedwar ar bymtheg. |
| XX | 20 | ugain. |
| XXI | 21 | un ar ugain. |
| XXII | 22 | dau ar ugain. |
| XXIII | 23 | tri ar ugain. |
| XXIV | 24 | pedwar ar ugain. |
| XXV | 25 | pump ar ugain. |
| XXVI | 26 | chwech ar ugain. |

XXVII

| | | |
|---|---|---|
| XXVII | 27 | ſaith ar ugain. |
| XXVIII | 28 | wŷth ar ugain. |
| XXIX | 29 | naw ar ugain. |
| XXX | 30 | deg ar ugain. |
| XXXI | 31 | un ar ddeg ar ugain. |
| XXXII | 32 | deu-ddeg ar ugain. |
| XXXIII | 33 | tri ar ddeg ar ugain |
| XXXIV | 34 | pedwar ar ddeg ar ugain. |
| XXXV | 35 | pymtheg ar ugain. |
| XL | 40 | deugain. |
| XLI | 41 | un a deugain. |
| L | 50 | deg a deugain. |
| LII | 52 | deuddeg a deugain. |
| LX | 60 | tri-ugain. |
| LXIII | 63 | tri a thriugain. |
| LXX | 70 | deg a thrigain. |
| LXXIV | 74 | pedwar ar ddeg a thriugain |
| LXXX | 80 | pedwar ugain. |
| LXXXV | 85 | pump a phedwar ugain. |
| XC | 90 | deg a phedwar ugain. |
| XCVI | 96 | un ar bymtheg a phedwar ugain. |
| C | 100 | cant. |
| CVII | 107 | ſaith a chant. |
| CX | 110 | deg a chant. |
| CXVIII | 118 | tri ar bymtheg a chant. |
| CXX | 120 | ugain a chant. |
| CXXIX | 129 | naw ar hugain a chant. |
| CXXX | 130 | cant a deg ar hugain. |
| CXL | 140 | cant a deugain. |

CL

| | | |
|---|---|---|
| CL | 150 | cant a dêg a deugain. |
| CLX | 160 | cant a thri ugain. |
| CLXX | 170 | cant a deg a thri ugain. |
| CLXXX | 180 | cant a phedwar ugain. |
| CXC | 190 | cant a deg a phedwar ugain. |
| CC | 200 | dau-cant. |
| CCL | 250 | dau-cant a deg a deugain. |
| CCC | 300 | tri chant. |
| CD | 400 | pedwar cant. |
| D | 500 | pum cant. |
| DC | 600 | chwe chant. |
| DCC | 700 | saith gant. |
| DCCC | 800 | wŷth cant. |
| CCIↃ. CM. | 900 | naw cant. |
| ICIↃ. M. | 1000 | mîl. |
| ICIↃC. MC. | 1100 | mîl a chant. |
| ICIↃD. MD. | 1500 | mîl a phum cant. |
| IICIↃ. MM. | 2000 | dwŷ fil. |
| VCIↃ | 5000 | pum mîl. |
| XCIↃ | 10000 | deng-mîl. |
| XXCIↃ | 20000 | ugain mîl. |
| LCIↃ | 50000 | dêg a deugain mîl. |
| LLCIↃ | 100000 | can mîl. |
| DCIↃ | 500000 | pum can mîl. |
| MCIↃ | 1000000 | buna, neu fil o filoedd. |

Di a weli nad oes yn y Golofn gyntaf ond wŷth o Ffigurau, y rhain ydynt, I. V. X. L. C. D. M. CIↃ.

Ag yn y Golofn ddiweddaf onid naw o Ffigurau, y rhain ydynt, 1, 2, 3, 4, 5, 6, 7, 8, 9.

Y

Y rhain wrth eu cysylltu mewn tresn arferol ymhlith y nodau hyn ooo. a arwyddant bôb rhifedi: y nesaf at dy law ddehau sy'n sefyll am unau, a'r nesaf at honno am ddegau, a'r drydydd am gantoedd, a'r bedwaredd am filoedd, a'r bumed am ddegau o filoedd, a'r chweched am gantau o filoedd, a'r saithfed am filoedd o filoedd, &c.

---

*Dechreu a diwedd y Tympau Cyfraith, yn y gorllewinawl fynachlŷs yn y flwŷddŷn,* 1688.

| | | |
|---|---|---|
| Tymp Elian sŷ'n | Dechreu, | Jonawr y 23 dŷdd. |
| | Diweddu, | Chwefror y 12 dŷdd, |
| Tymp y Pasg sŷ'n | Dechreu, | Mai yr ail dŷdd. |
| | Diweddu, | Mai yr 28 dŷdd. |
| Tymp y Drindod sŷ'n | Dechreu, | Mehefin y 15 dŷdd. |
| | Diweddu, | Gorphennaf y 4 dŷdd. |
| Tymp Mihangel sŷ'n | Dechreu, | Hydref y 23 dŷdd. |
| | Diweddu, | Tachwedd yr 28 dŷdd. |

---

*Y nodau Cyffrednawl, a'r symmudawl ymprydiau yn y flwŷddŷn,* 1688.

| | |
|---|---|
| Y Prif, neu'r Euraid rifedi ŷw | 17 |
| Y serrit, neu'r Epact ŷw | 7 |
| Llythyrennau'r sûl ŷw | A. G. |
| O suliau gwedi 'r ystwŷll i mae | 5 |
| Sûl septuagesima, chwefror y | 12 |
| Y dŷdd Cyntaf o'r Grawŷs, mis mawrth y | 1 |
| Sûl y Pasg, Ebrill y | 15 |
| Sûl y gweddiau, neu'r Erfŷniad, Mai yr | 20 |
| Derchafiad Crist i'r nêf, neu dŷdd-Iou derchafael, Mai y | 24 |
| Y Sul-gwŷn, mehefin y | 3 |
| Sûl y Drindod, mehefin y | 10 |

O ſuliau gwedi 'r drindod i mae ——————————— 24
Sûl yr Adfent, neu ddyfodiad Crîſt, Rhagfŷr yr ——— 2

---

## *Am y Diffygiadau a ddigwyddant ar yr haul, a'r lleuad yn y flwŷddŷn,* 1688.

PEdwar diffŷg a fŷdd yn y flwŷddŷn hon,(os dilŷn y ſêr gwrs eu naturiaeth,) dau ar yr haul, a dau ar y lleuad.

Y Cyntaf o honŷnt a fŷdd ar y 'Lleuad, ar y pummed dŷdd o Ebrill ynghŷlch chwêch o'r prŷdnawn, ac ni welir mono gyda ni o herwŷdd ei fôd cŷn Codi 'r lleuad.

Yr ail diffŷg a fŷdd ar yr haul, ar yr ugeinfed dŷdd o Ebrill ynghŷlch un ar y glôch y boreu, ac am hynnŷ ni welir mono gyda ni.

Y trydŷdd a fŷdd ar y lleuad, ar y nawfed dŷdd ar hugain o fîs medi, ynghŷlch dêg ar y glôch y boreu ac ni welir mono gyda ni.

Y pedwaredd diffyg a fŷdd ar yr haul, y pedwaredd dŷdd ar ddêg o hydref, ynghŷlch ſaith y boreu, ac ni bŷdd ond bychan, ac ni welir mono gyda ni o herwŷdd ei fôd ar godiad yr haul.

Heblaw'r diffygiadau hŷn, bŷdd diffygiadau eraill y leni mewn llawer o wledŷdd, ac ond odid mewn rhai mannau ynghymru: Lle y bo merched yn ddeg ar hugain oed Cŷn eu priodi, diammeu y bŷdd arnŷnt ddiffŷg naill a'i Cynhyſgaeth a'i glendid.

---

## *Egluriad dalennau'r miſoedd yn yr Almanac hwn.*

Y Flwŷddŷn a ranwŷd yn ddeuddeg o fiſoedd, ac i bôb mîs o honŷn i mae dau du dalen yn perthŷn, a'r tu dalen Cyntaf or ddau a ranwŷd yn wŷth o golofnau.

1. Y golofn gyntaf o honŷnt, neu'r neſa at y llaw aſw ſŷn dangos dyddiau 'r mîs, lle y gwelwch. 1, 2, 3, 4, 5, &c.

2. Yr ail golofn ſŷ'n dangos dyddieu'r wŷthnos, lle y gwelwch A. b. c. d. e. f. g. gwŷbyddwch mae 'r llythyren-

nau

nau mawrion yn y golofn ymma sŷ'n sefŷll am y suliau, fel A. G. am y leni, A am y suliau yn Jonawr, a'r tri sul'au Cynta yn chwefror, ac G am yr hôll suliau eraill yn y flwŷddŷn,

3. Y drydŷdd golofn sŷ'n dangos y dyddiau gwŷlion, a'r dyddiau hynod, a gwŷlmabsanctau Cymru, a'r dyddiau a rhoddwŷd llawer o gristionogion i farwolaeth am eu Crefŷdd, ond gwŷbyddwch fôd yr hôll ddyddiau sŷdd orchymmŷnedig iw Cadw yn wŷlion gwedi eu hargraphu a llythyrennau duach a mwŷ na'r lleill.

4. Y bedwaredd golofn sŷ'n dangos pa lê y bŷdd yr arwŷddion ynghorph dŷn ac enifail ar bôb dŷdd, fel y gwelwch yn y golofn hono gyferbŷn a'r dŷdd Cynta a'r ail o Jonawr, gwddw, yn dangos i chwi fôd yr arwŷdd y dyddiau hynny yn y gwddw.

5. Y bummed golofn a ddengus godiad y lleuad o'i llawnlloned iw newidiad; a'i machludiad o'i newidiad iw llawn lloned, yr awr tan A, ar mynudŷn tan m, wrth ac ar ôl n sŷ'n arwŷddo nos neu cyn hanner nos, wrth ac arôl b sŷ'n arwŷddo boreu neu rhwng hanner nôs a hanner dŷdd.

6. Y chweched golofn sŷ'n dangos pen llanw 'r môr bôb dŷdd a nôs yn y flwŷddŷn 1688. oddeutu Cymru, gyferbŷn ar dŷdd a fynnoch Cewch yr awr tan A, a'r mŷnud tan m, a hynnŷ a wasanaetha ddŷdd a nôs, neu foreu a hwŷr, heb fawr fai.

7. Y seithfed golofn sŷ'n dangos Codiad yr haul bôb dŷdd drwŷr flwŷddŷn, yr awr tan A, a'r mŷnud tan m.

8. Yr wythfed golofn, neu'r golofn nesa at y llaw ddeheu sŷ'n dangos machludiad yr haul beunŷdd, Cewch yr awr tan A, ar mŷnud tan m.

Yr ail tu dalen am bôb mîs sŷ mor eglur na bô raid ymma mo' u heglurо.

Yr ymmadrodd ynghŷlch ysmonnaeth sŷdd wrth ysmonnaeth y Saeson, lle y bo tîr Cymru yn oerach na thîr Lloegr rhaid iw heu ŷd a phethau eraill yn ddiweddarach na'r amseroedd a hennwŷd ymma.

# JONAWR. 1688.

| dyddieu 'r mis | dyddieu'r wythnos | Y Dyddiau gwylion, a'r ddydiau hynod. | Yr arwyddion yng-horph dyn ac Enifail. | Codiad, a machludiad y Lleuad. A. | | M. | Pen llanw'r môr. A. | M. | Haul yn Codi A. | M. | Haul yn machlud A. | M. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | A | Enwaediad Crist. | Gwddw. | 2 | lleuad yn mach | 34 | 6 | 50 | 8 | 9 | 3 | 51 |
| 2 | b | Bodfan, ac Abel. | Gwddw. | 3 | | 27 | 7 | 43 | 8 | 8 | 3 | 52 |
| 3 | c | Seth, Enoch. | ysgwŷddau. | 4 | | 14 | 8 | 36 | 8 | 7 | 3 | 53 |
| 4 | d | Methusalem. | breichiau. | 5 | | 7 | 9 | 29 | 8 | 6 | 3 | 54 |
| 5 | e | Seimon. | bronnau, | 6 | | 0 | 10 | 18 | 8 | 4 | 3 | 56 |
| 6 | f | Dydd ystwyll. | sefnig, | 6 | | 55 | 11 | 9 | 8 | 3 | 3 | 57 |
| 7 | g | Cêd Esgob. | Cylla. | — | | — | 12 | 0 | 8 | 1 | 3 | 59 |
| 8 | A | 1 Sul gwedi'r ystw. | Cefen. | 4 | N | 10 | 12 | 45 | 8 | 0 | 4 | 0 |
| 9 | b | Mercel. | Calon. | 5 | lleuad yn Codi | 38 | 1 | 30 | 7 | 58 | 4 | 2 |
| 10 | c | Paul Erem. | y bol a'r | 7 | | 16 | 2 | 15 | 7 | 56 | 4 | 4 |
| 11 | d | Hygin. | perfedd, | 8 | | 44 | 3 | 0 | 7 | 55 | 4 | 5 |
| 12 | e | Llwchaern. | Ceudod. | 9 | | 33 | 3 | 45 | 7 | 54 | 4 | 6 |
| 13 | f | Elian Esgob. | Clunniau, | 10 | | 22 | 4 | 30 | 7 | 52 | 4 | 8 |
| 14 | g | Ffelics. | pedrain. | 11 | | 11 | 5 | 15 | 7 | 51 | 4 | 9 |
| 15 | A | 2 Sul gwedi'r ystw. | yr Arffed | 12 | | 0 | 6 | 0 | 7 | 50 | 4 | 10 |
| 16 | b | Marchell. | a'r dirgel- | 12 | B | 50 | 6 | 45 | 7 | 48 | 4 | 12 |
| 17 | c | Anthony. | wch. | 1 | | 45 | 7 | 30 | 7 | 46 | 4 | 14 |
| 18 | d | Prisca. | morddwŷ- | 2 | | 40 | 8 | 15 | 7 | 44 | 4 | 16 |
| 19 | e | Wastan. | dŷdd. | 3 | | 36 | 9 | 0 | 7 | 43 | 4 | 17 |
| 20 | f | Ffabian. | gliniau a | 4 | | 30 | 9 | 45 | 7 | 41 | 4 | 19 |
| 21 | g | Annes, neu Agnes. | garrau. | 5 | | 26 | 10 | 30 | 7 | 39 | 4 | 21 |
| 22 | A | 3 Sul gwedi'r ystw. | Goesau neu | 7 | | 20 | 11 | 15 | 7 | 37 | 4 | 23 |
| 23 | b | Tymp yn dechreu. | Esgeiriau. | — | | — | 12 | 0 | 7 | 35 | 4 | 25 |
| 24 | c | Cattwg. | Traed, | 4 | lleuad yn machlud | 30 | 12 | 46 | 7 | 34 | 4 | 26 |
| 25 | d | Troead St. Paul. | Traed. | 5 | | 50 | 1 | 33 | 7 | 32 | 4 | 28 |
| 26 | e | Polycarpus. | Pen ac | 7 | | 10 | 2 | 21 | 7 | 30 | 4 | 30 |
| 27 | f | Joan, Aeron. | wŷneb. | 8 | | 30 | 3 | 10 | 7 | 28 | 4 | 32 |
| 28 | g | Oevig. | gwddw. | 10 | | 00 | 4 | 00 | 7 | 26 | 4 | 34 |
| 29 | A | 4 Sul gwedi'r ystw. | gwddw. | 11 | | 20 | 4 | 51 | 7 | 24 | 4 | 36 |
| 33 | b | merthyr. B. Charl. I | ysgwŷddau, | 12 | B | 40 | 5 | 43 | 7 | 22 | 4 | 38 |
| 31 | c | Mihangel. | breichiau. | 1 | | 50 | 6 | 36 | 7 | 20 | 4 | 40 |

| | |
|---|---|
| Y | llawnlloned y 7 dŷdd, 12 mŷnud gwedi un o'r prŷdn |
| Lleuad | 3 charter oed y 15 dŷdd, 10 mŷnud Cyn 5 o'r prŷdn |
| ſŷdd | newidio y 22 dŷdd, 12 mŷnud gwedi 10 o'r nos. |
| yn | un chwarter oed y 29 dŷdd, gwedi haner dŷdd. |

Pôb Hwnſman dâ a ddyleu yn y mîs hwn yſgythru pôb Canghennau gormodedd oddiar ei brennau toreth, a datguddio eu gwraidd hwŷnt, A phlannu pôb mâth a'r ſiettus a Choed toreth ar y Chwarter Cyntaf o'r Lleuad, a phan ſyddo 'r Tywŷdd yn dymherus ac yn glaear a'r gwŷnt yn y deheu neu 'r gorllewin, plennwch ffâ a ffŷs gerddi a llyſiau gwŷddelig pan ſo'r Tywŷdd yn glaear, a'r lleuad yn lleihau ; Pelwch eich gerddi y mîs hwn.

Na ollynged nêb waed yn y mîs hwn, ac na Chymmered byſygwriaeth o ddigerth bôd yn Angenrheidiol iddo: Gochelwch gael Anwŷd yn y mîs hwn, oblegŷd i mae yn magu pôb mâth ar Lyſnafedd a Glofoerion, ſef *Riwms a ffiêms.* Drŵg i chwi ymprydio neu gadw eich Cythlwn yn hîr y boreu. Yfed gwîn gwŷn ar gythlwn ſŷ ddâ. Bydded eich bwŷd mewn gweddeidd-dra o frydaniaeth, o herwŷdd goreu pyſŷgwriaeth yn y mîs hwn ŷw bwŷd a dillad Cynnes, a Thân dâ, a Chywelu nwŷfus. Nid ŷw'r ſêr yn bygwth y bŷdd rhaid bôd ar nêb eiſien 'r pathau hynnŷ os bŷdd ganthynt ddigon o Arian, ond y nêb a fô diariannog a geiff wŷbod bêth ŷw eiſieu pôb un o honŷnt. Y bôbl ddâ o herwŷdd y 'ch bôd chwi yn brin gwnewch yn fawr o honoch eich hunnain.

Os bŷdd pêth Rhew ar ddechreu 'r mîs, ni pheru ond ychydig amſer ; Amla tywŷdd a ddiſgwilir yr hanner Cynta or mîs hwn, ŷw ymbell gafod o ôd neu wlaw oer, ac awŷr gymmylog a gwŷnt llŷm: Ond yr hanner diwedda o'r mîs a fydd tebŷg i fôd yn rhewlŷd, ac oddetiid bŷdd pêth eira Cŷn diwedd y mîs.

# CHWEFROR. 1688.

| dyddiau'r mis | dyddiau'r wythnos | Y Dyddiau gwylion, a'r dyddyau hynod. | Yr Arwyddion yng horph dyn ac Enifail. | Codiad, a machludiad y Lleuad. A. | | M | Pen Llanw'r môr A. | M. | Haul yn Codi A. | M. | Haul yn machlud A. | M. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | d | Bridget. | dwylo. | 2 | B | 0 | 8 | 29 | 7 | 10 | 4 | 48 |
| 2 | e | Gwyl fair y Canh | bronnau, | 3 | Machlud | 0 | 9 | 17 | 7 | 17 | 4 | 43 |
| 3 | f | Llywelyn. | brwyden. | 4 | | 0 | 10 | 5 | 7 | 15 | 4 | 45 |
| 4 | g | Gilbart. | Cefen, | 5 | | 0 | 10 | 53 | 7 | 13 | 4 | 47 |
| 5 | A | 5 Sul gwedir ystw. | Calon. | 6 | | 0 | 11 | 40 | 7 | 11 | 4 | 49 |
| 6 | b | Cyhoeddwyd y Bre. | y bol | 7 | | 0 | 12 | 30 | 7 | 9 | 4 | 51 |
| 7 | c | Romwald. | a'r | — | — | — | 1 | 20 | 7 | 7 | 4 | 53 |
| 8 | d | Solome. | perfedd. | 5 | N | 0 | 2 | 10 | 7 | 5 | 4 | 55 |
| 9 | e | Apollon. | pedrain | 6 | | 8 | 3 | 0 | 7 | 3 | 4 | 57 |
| 10 | f | Alexander. | neu | 7 | | 16 | 3 | 50 | 7 | 1 | 4 | 59 |
| 11 | g | Euphrod. | Cluniau. | 8 | Lleuad | 24 | 4 | 40 | 6 | 59 | 5 | 1 |
| 12 | A | Sul septuagesima. | Arphed, | 9 | | 32 | 5 | 30 | 6 | 57 | 5 | 3 |
| 13 | b | nos tynny falandein. | dirgelwch. | 10 | | 40 | 6 | 20 | 6 | 54 | 5 | 6 |
| 14 | c | dydd g. falandein. | morddwyd. | 11 | B | 48 | 7 | 10 | 6 | 52 | 5 | 8 |
| 15 | d | Faustin. | morddwyd. | 12 | | 56 | 8 | 0 | 6 | 50 | 5 | 10 |
| 16 | e | Polychrau. | glinniau, a | 1 | yn Codi | 40 | 8 | 50 | 6 | 48 | 5 | 12 |
| 17 | f | Diascordia. | garrau, | 2 | | 40 | 9 | 40 | 6 | 46 | 5 | 14 |
| 18 | g | Undebyst. | Coesau, | 3 | | 40 | 10 | 30 | 6 | 44 | 5 | 16 |
| 19 | A | Sul sexagesima. | Coesau. | 4 | | 40 | 11 | 20 | 6 | 42 | 5 | 18 |
| 20 | b | Eucharyst. | Traed, | 5 | | 40 | 12 | 10 | 6 | 40 | 5 | 20 |
| 21 | c | y 69 merthyron. | Traed. | — | — | — | 1 | 50 | 6 | 38 | 5 | 22 |
| 22 | d | Cadair Peter. | pen ac | 5 | N | 40 | 2 | 37 | 6 | 36 | 5 | 24 |
| 23 | e | Egbert Frenin. | wyneb. | 6 | Lleuad | 40 | 3 | 28 | 6 | 34 | 5 | 26 |
| 24 | f | Intercal. | gwddw, | 7 | | 46 | 4 | 0 | 6 | 32 | 5 | 2[illegible] |
| 25 | f | Gwyl S. Matthias | gwddw, | 8 | yn mach. | 52 | 4 | 40 | 6 | 30 | 5 | 3[illegible] |
| 26 | G | Sul ynyd. | gwddw. | 9 | | 58 | 5 | 20 | 6 | 29 | 5 | 31 |
| 27 | a | Dydd llun ynyd. | ysgwyddau, | 11 | | 6 | 6 | 16 | 6 | 27 | 5 | [illegible] |
| 28 | b | Dydd mawrth ynyd. | breichiau. | 12 | | 10 | 7 | 0 | 6 | 24 | 5 | [illegible] |
| 29 | c | mercher y lluwd. | bronnau. | 1 | B | 17 | 7 | 32 | 6 | 22 | 5 | 38 |

| | |
|---|---|
| Y Lleuad sŷdd yn | llawn lleuad y 6 dŷdd. 4 mŷnud gwedi 7 y boreu.<br>3 chwarter oed y 14 dŷdd. gwedi 10 y boreu.<br>newidio yr 21 dŷdd. 24 mŷnud gwedi 8 y boreu.<br>un chwarter oed yr 28 dŷdd han. awr Cyn un y boreu. |

Y mîs hwn hefŷd sŷdd amser dâ i ddadwreiddio, ac i blannu sietus îrion, a rhôswŷdd, a gwinwŷdd, a hops, a phôb mâth ar dympathau ar a ddygo ffrwŷth, ac i hau pŷs, a ffâ, a winwŷns, a phôb mâth ar Salet a llysiau Crochon erbŷn yr hâ. Tocciwch bôb blegurŷn gormodedd ar eich prennau toreth, a difwsoglwch a glânhewch hwŷnt oddiwrth bôb llygredigaeth, symmŷdwch eich plannhigion, a 'ch Coed Ieuaingc ar y chwarter diweddaf o'r Lleuad, a phan fo'r Arwŷdd yn y pen, y Cluniau, neu 'r Arffed.

Gellir gollwng gwaed os bŷdd angenrhaid yn y mîs hwn, na chymmerwch bysygwriaeth yn y mis ymma o ddigerth bôd yn angenrhaid i chwi. Gochelwch gael yr anwŷd pan ddigwŷddo diwrnod Claear drwŷ esgeulustra, o blegŷd nid parrhaus ŷw'r Awel glaear yn y mîs hwn. Pôb mâth ar fwŷd llymrig megis pysgod, a llaeth, sŷ'n Caethiwo'r gwŷthennau, a'r Afu neu'r ysgyfent, ac yn Tewychŷ'r gwaed, ac am hynnŷ nid ydŷnt amgen na gelynnion i'r Iechŷd yn y mîs hwn.

Tua diwedd y mîs hwn, byddwch tebŷg i glywed pêth newŷdd ynghylch dyrnu ieir, a gwneuthur Crempogau: ond os digwŷdd i nêb dori eu boliau wrth fwŷta Crempogau, bŷdd hynnŷ newŷdd drŵg iawn.

Os bŷdd Rhew ar ddechreu'r mîs hwn, ni pheru ond ychydig amser, mae 'r planedau yn addo oerni a gwŷnt Cyffroes ar y dechreu. Ynghŷlch yr wŷthfed neu'r nawfed dŷdd bŷdd tebŷg i dori yn deg ag yn glaear. Tua chanol y mîs ond odid bŷdd oerach drachefen, a rhai Cafodŷdd o wlaw neu ôdwlaw. A thua 'r diwedd pôb mâth ar dywŷdd anwadal, a phêth rhew.

MAWRTH

# MAWRTH. 1688.

| dyddiau'r mis. | dyddiau'r wythnos. | Y Dyddiau gwylion, a'r Dyddiau hynod. | Yr Arwyddion ygghorph dyn ac Enifail. | Codiad, a machludiad y lleuad. A. | | M. | Pen llanw'r môr. A. | M. | Haul yn Codi. A. | M. | Haul yn machlud A. | M |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | d | **Gwyl Ddewi.** | Brwyden. | 4 | B | 12 | 8 | 20 | 6 | 20 | 5 | 40 |
| 2 | e | Siad, mawthwl. | Y Cefen | 4 | machludo | 48 | 9 | 9 | 6 | 18 | 5 | 42 |
| 3 | f | Noe fam ddewi. | a'r galon. | 5 | | 24 | 9 | 52 | 6 | 16 | 5 | 44 |
| 4 | G | 1 **Sul** o'r grawys. | Y bol ar | 5 | | 56 | 10 | 35 | 6 | 14 | 5 | 46 |
| 5 | a | Theophilus. | perfedd. | 6 | | 12 | 11 | 15 | 6 | 11 | 5 | 49 |
| 6 | b | Pryden. | Cluniau, | | | | 12 | 0 | 6 | 8 | 5 | 52 |
| 7 | c | Thomas, a sannan. | Cluniau. | 6 | N | 20 | 12 | 59 | 6 | 6 | 5 | 54 |
| 8 | d | Philomen. | Arphed a | 7 | lleuad yn | 40 | 1 | 48 | 6 | 4 | 5 | 56 |
| 9 | e | Pryden. | dirgelwch, | 9 | | 0 | 2 | 37 | 6 | 2 | 5 | 58 |
| 10 | f | dydd a nôs un hyd. | dirgelwch. | 10 | | 20 | 3 | 26 | 6 | 0 | 6 | 0 |
| 11 | G | 2 **Sul** o'r grawys. | norddwyd, | 11 | | 40 | 4 | 15 | 5 | 51 | 6 | 2 |
| 12 | a | Gregory. | norddwyd; | 1 | B | 0 | 5 | 4 | 5 | 56 | 6 | 4 |
| 13 | b | Tudur, Edward. | morddwyd. | 2 | | 21 | 5 | 53 | 5 | 54 | 6 | 6 |
| 14 | c | Candyn myrthyri. | glinniau | 2 | | 40 | 6 | 42 | 5 | 52 | 6 | 8 |
| 15 | d | Wynebog. | a | 3 | Codi. | 0 | 7 | 31 | 5 | 50 | 6 | 10 |
| 16 | e | Cyfodiad Lazerus. | garrau. | 3 | | 20 | 8 | 20 | 5 | 48 | 6 | 12 |
| 17 | f | Padrig wyddel. | Coesau. | 3 | | 40 | 9 | 9 | 5 | 46 | 6 | 14 |
| 18 | G | 3 **Sul** o'r grawys. | Coesau, | 4 | | 0 | 9 | 52 | 5 | 44 | 6 | 16 |
| 19 | a | Cymbryd, | Traed. | 4 | | 40 | 10 | 35 | 5 | 42 | 6 | 18 |
| 20 | b | Twthert. | Traed. | 5 | | 20 | 11 | 15 | 5 | 40 | 6 | 20 |
| 21 | c | Bened. | Pen ac | | | | 12 | 0 | 5 | 38 | 6 | 22 |
| 22 | d | Benediged. | wyneb. | 6 | N | 40 | 12 | 48 | 5 | 36 | 6 | 24 |
| 23 | e | Godfridus. | gwddw. | 7 | lleuad yn | 42 | 1 | 36 | 5 | 34 | 6 | 26 |
| 24 | f | Rwirinus. | gwddw. | 8 | | 44 | 2 | 14 | 5 | 32 | 6 | 28 |
| 25 | G | **Beichiogiad mair** | ysgwyddau. | 9 | | 46 | 3 | 2 | 5 | 30 | 6 | 30 |
| 26 | a | Castulus. | breichiau. | 10 | | 48 | 3 | 50 | 5 | 28 | 6 | 32 |
| 27 | b | Jo. Erem. | bronnau, | 11 | | 50 | 4 | 38 | 5 | 26 | 6 | 34 |
| 28 | c | Gideon. | bronnau, | 12 | B | 50 | 5 | 26 | 5 | 24 | 6 | 36 |
| 29 | d | Eustachius. | brwyden. | 1 | maehl. | 54 | 6 | 14 | 5 | 22 | 6 | 38 |
| 30 | e | Guido. | Cefen, | 2 | | 26 | 7 | 2 | 5 | 20 | 6 | 40 |
| 31 | f | Balbina. | Calon. | 3 | | 8 | 7 | 50 | 5 | 18 | 6 | 42 |

Y Lleuad sydd yn { llawnlloned y 7 dydd, ynghylch 2 y boreu.
3 chwarter oed y 15 dydd, gwedi un y boreu.
newidio yr 21 dydd, arôl 5 o'r prydnawn.
un chwarter oed yr 28 dydd, rhwng 2 a 3 or prydnawn.

Yn y mîs hwn (gan ddewis y tywydd) plennwch a thaclusswch fiettus Ieuaingc, a gorchguddiwch wraidd eich Coed ffrwythlawn y rhain a ddatguddiasoch yn Rhagfyr a Ionawr, Heuwch Gyrch, a Haidd, a moron Gwnnion a Chochion, winwyns, Melonau, Cucummers, a phôb mâth ar Lysiau Crochon. Plennwch Hartichôcs a Saeds, A heuwch bôb mâth ar hâd gerddi.

Yngynghorwch yn y mîs hwn (os bydd achos) a Rhyw glyfyddgar bysygwr. Dymma'r amser goreu yn y flwyddyn i illwng gwaed, ac i gymmeryd Pysygwriaeth os bydd achos. Na fwytaed nêb ond gweddiedd-dra yn y mîs hwn, a hynny o'r bwyd a ddygymmyddo oreu a'r Corph, ac a fyddo ffrwythlawn a mwythus-fwyd. Gochelwch bôb pêth hallt, Purwch eich gwaed drwy gymmeryd pysygwriaethawl ddiod, a gollwng gwaed. Bwyd a diod melusion sydd oreu yn y mîs hwn. Na esgeulused nêb fwytta ar foreu Cynyfed.

Iachach iw ymlenwi ar gawl neu bottes pys nag ar lîd a Chynfigen yn y mîs hwn. Os gwnewch gawl neu bottes nawrhyw ar y dydd Cyntaf o'r mîs, er dim ar a fo rhowch gennin peder ynddo, gwell yw gadel yr hôll lysiau eraill allan o hono na'r un llysieuyn hwnnw.

Têg a sych ac eglur ar ddechreu'r mîs, A rhew ar foreuau, Anwadal o'r nawfed dydd hyd ddiwedd y mîs, weithiau glaw, weithiau odwlaw, weithiau Cenllysg, weithiau gwyntiog, weithiau ebrwydd gafodydd.

# EBRILL. 1688.

| dyddiau'r mîs. | dyddiau'r wythnos. | Y dyddiau gwŷlion, a'r dyddiau hynod. | Yr Arwŷddion yng horph dŷn, ac Enifail. | Codiad, a machludiad y lleuad. A. | | M. | Pen llanw 'r môr. A. | M. | Haul yn Codi A. | M. | Haul yn machlud A. | M. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | G | 3 Sul o'r grawŷs. | Y bol | 2 | B | 20 | 8 | 38 | 5 | 16 | 6 | 44 |
| 2 | a | mynediad Mair i'r | a'r | 3 | mach | 40 | 9 | 26 | 5 | 14 | 6 | 46 |
| 3 | b | Richard. (Aipht. | perfedd. | 4 | | 56 | 10 | 14 | 5 | 12 | 5 | 48 |
| 4 | c | Tyrnog, Ambros. | Clunniau, | 5 | | 20 | 11 | 2 | 5 | 10 | 6 | 50 |
| 5 | d | Derfel gadarn. | Clunniau. | — | | — | 11 | 50 | 5 | 8 | 6 | 52 |
| 6 | e | Llywelŷn. | yr Arphed | 7 | N | 0 | 12 | 38 | 5 | 6 | 6 | 54 |
| 7 | f | Ethelwal Frenin. | a'r | 8 | lleuad | 7 | 1 | 26 | 5 | 5 | 6 | 56 |
| 8 | G | Sul y Blodau. | dirgelwch. | 9 | | 14 | 2 | 14 | 5 | 3 | 6 | 58 |
| 9 | a | Albinus. | morddwŷd, | 10 | | 21 | 3 | 2 | 5 | 2 | 6 | 59 |
| 10 | b | y saith gwŷryson. | morddwŷd. | 11 | | 28 | 3 | 50 | 5 | 0 | 7 | 00 |
| 11 | c | Liberws. | glinniau | 12 | B. | 35 | 4 | 8 | 4 | 58 | 7 | 2 |
| 12 | d | Hugh Esgob. | a garrau. | 1 | yn | 40 | 4 | 56 | 4 | 56 | 7 | 4 |
| 13 | e | gwener y Croglith. | Coesau, | 2 | Codi. | 11 | 5 | 40 | 4 | 54 | 7 | 6 |
| 14 | f | Tiburtius. | Coesau. | 2 | | 42 | 6 | 40 | 4 | 52 | 7 | 8 |
| 15 | G | Sul y Pasc. | Traed, | 3 | | 13 | 7 | 42 | 4 | 50 | 7 | 10 |
| 16 | a | Padarn. | Traed. | 3 | | 44 | 8 | 44 | 4 | 48 | 7 | 12 |
| 17 | b | Anticetus. | pen ac | 4 | | 10 | 9 | 45 | 4 | 46 | 7 | 14 |
| 18 | c | Oswŷn. | wŷneb. | 4 | | 30 | 10 | 56 | 4 | 44 | 7 | 16 |
| 19 | d | Timothy. | gwddw, | 4 | | 50 | 12 | [illegible] | 4 | 42 | 7 | 18 |
| 20 | e | Cadwalad Frenin. | gwddw. | — | | — | 12 | 55 | 4 | 40 | 7 | 20 |
| 21 | f | Seimon. | ysgwyddau, | 7 | N | 40 | 1 | 50 | 4 | 38 | 7 | 22 |
| 22 | G | Sul y Pasc bychan | breichiau, | 8 | lleuad | 54 | 2 | 45 | 4 | 36 | 7 | 24 |
| 23 | a | Siorsŷn sais. Coroni. | dwŷlo. | 9 | yn | 48 | 3 | 40 | 4 | 34 | 7 | 26 |
| 24 | b | Albertus. (y Brenin. | bronnau, | 10 | | 40 | 4 | 35 | 4 | 32 | 7 | 28 |
| 25 | c | Gwyl St. Marc. | brwŷden. | 11 | | 30 | 5 | 30 | 4 | 30 | 7 | 30 |
| 26 | d | Clari, Cletus. | Cefen, | 12 | | 0 | 6 | 25 | 4 | 28 | 7 | 32 |
| 27 | e | Walburg Frenin. | Calon. | 12 | B | 49 | 7 | 20 | 4 | 26 | 7 | 34 |
| 28 | f | Fitalus Ferthŷr. | y bol | 1 | mach | 18 | 8 | 15 | 4 | 24 | 7 | 36 |
| 29 | G | 2 Sul gwedi'r pasc. | a'r | 1 | | 50 | 9 | 10 | 4 | 22 | 7 | 38 |
| 30 | a | Josua. | perfedd. | 2 | | 25 | 10 | 5 | 4 | 20 | 7 | 40 |

# EBRILL. 1688.

Y Lleuad sŷdd yn
- llawnlloned y 5 dŷdd, 4 mŷnud gwedi 6 o'r prydnawn.
- 3 chwarter oed y 13 dŷdd, 4 mŷnud arôl hanner dŷdd.
- newidio yr 20 dydd, hanner awr gwedi 3 y boreu:
- un Chwarter oed y 27 dŷdd, rhwng 6 a 7 y boreu.

Yn y mîs hwn heuwch gywarch a llîn. A gosodwch bolion i'ch Hops, heuwch bôb mâth ar hâd gerddi, helaethwch gyfyngder y Gwenŷn drwŷ egorŷd drws eu Cychau, a'u gillwng i gasglu eu Cyfreidiau erbŷn gauaf arall: Diriſclwch rîſcl i'r Barcwŷr yn y mîs hwn. Edryched pôb hwſwi ddâ at eu gerddi, a meddylied mewn amſer am Lyſodraeth eu buches. Pôb trînŷdd gerddi a ddylent hau ar ſychder, a phlannu ar lybaniaeth.

Pyſygwriaeth yn y mîs hwn ſŷ brydlawn iawn, ac ymddiſbaddu neu yrloeſi'r Corph, a gollwng gwaed: A garo ei Jechŷd ymgadwed heb yfed gwîn yn y mîs hwn, oblegŷd i fôd yn gwreiddio amriw o ddoluriau ynghorph y ſawl a'i hyfo yn Ebrill, ac yn diniſtrio enioes llawer glanddŷn oddiar wŷneb y ddaiar. Yn y mîs hwn bŷdd pôrs y Corph yn egored, ac yn gymwŷs i dderbŷn pyſygwriaeth; ac am hynnŷ dymma 'r amſer Cyſleuſaf a hawſaf i ymwared oddiwrth bôb afiechŷd, ac i Jachau y nêb a fo yn goſidio dan gaethiwed eu doluriau.

Os digwŷdd y mîs hwn yn dêg bŷdd yr adar pluog yn llawer dedwyddach na'r merched boneddigion, oblegŷd pan godo'r Adar y boreu byddant drwſiadus yn ddi drafferth, a bŷdd rhaid i'r merched boneddigion gael dwŷ awr neu dair i wiſgo amdanynt: ac heblaw hynnŷ mae'r adar yn daclus iawn heb gôſt, y prŷd y bo gwchder, y gwragedd yn magu Conſymſiwn ym mhoccedau eu gwŷr.

Mae'r plannedau yn addo tywŷdd Cymhedrol i'r tymmor yr hanner Cyntaf or mis hwn, hynnŷ ydiw, Claear a thymherus, ag ymbell gafod o wlaw; A Thua 'chanol y mîs bŷdd tebŷg i oeri, ac i biccio ymbell gafod ddicllon o wlaw neu ôdwlaw, a pheth rhew ar foreuau yn diflannu blodeuau'r Coedŷdd. Pêth Teccach tua'r diwedd.

MAI.

# MAI. 1688.

| dyddiau'r mîs. | dyddiau'r wŷthnos | Y Diddiau gwŷlion, a'r dyddiau hynod. | Yr Arwŷddion yng-horph dŷn, ac Enifail. | Codiad, a machludiad y lleuad. A. | | M. | pen llanw'r môr. A. | M. | haul yn Codi. A. | M. | haul yn machlud A. | M |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | b | St. Philip, a St. Jago. | Cluniau, | 3 | B | 10 | 10 | 05 | 4 | 19 | 7 | 41 |
| 2 | c | Anthonasius. | Cluniau. | 3 | mach. | 50 | 11 | 08 | 4 | 17 | 7 | 43 |
| 3 | d | Dyfais y groes. | Arphed a | 4 | | 10 | 11 | 30 | 4 | 15 | 7 | 45 |
| 4 | e | Melangell. | dirgelwch, | 4 | | 20 | 12 | 00 | 4 | 13 | 7 | 47 |
| 5 | f | Gothard. | Arphed, | — | | — | 12 | 49 | 4 | 12 | 7 | 48 |
| 6 | G | 3 Sul gwedi'r pasc. | morddwŷd, | 8 | N | 36 | 1 | 41 | 4 | 11 | 7 | 49 |
| 7 | a | Stanislos. | morddwŷd | 9 | lleuad | 0 | 2 | 33 | 4 | 10 | 7 | 50 |
| 8 | b | Infental. | glinniau, | 9 | | 36 | 3 | 25 | 4 | 8 | 7 | 52 |
| 9 | c | Nicholas. | garrau. | 10 | | 20 | 4 | 17 | 4 | 7 | 7 | 53 |
| 10 | d | Pencrat. | Coesau, | 11 | | 0 | 5 | 9 | 4 | 6 | 7 | 54 |
| 11 | e | Cristian. | Coesau, | 12 | B | 27 | 6 | 1 | 4 | 4 | 7 | 56 |
| 12 | f | Penusus. | Coesau. | 12 | yn | 54 | 6 | 53 | 4 | 3 | 7 | 57 |
| 13 | G | 4 Sul gwedi'r pasc. | Traed, | 1 | Codi | 20 | 7 | 45 | 4 | 2 | 7 | 58 |
| 14 | a | Boniffas. | Traed. | 1 | | 43 | 8 | 37 | 4 | 0 | 8 | 0 |
| 15 | b | Sophia. | pen ac | 2 | | 10 | 9 | 29 | 3 | 59 | 8 | 1 |
| 16 | c | Granog. | wŷneb. | 2 | | 36 | 10 | 21 | 3 | 57 | 8 | 3 |
| 17 | d | Dynstan. | gwddwf, | 3 | | 0 | 11 | 13 | 3 | 56 | 8 | 4 |
| 18 | e | Sewel Esgob. | gwddwf. | — | | — | 12 | 00 | 3 | 54 | 8 | 6 |
| 19 | f | Sarah. | ysgwŷddau, | 8 | N | 30 | 12 | 45 | 3 | 52 | 8 | 8 |
| 20 | G | 5 Sul gwedi'r pasc. | breichiau. | 9 | | 00 | 1 | 30 | 3 | 51 | 8 | 9 |
| 21 | a | Collen. | bronnau, | 9 | lleuad | 30 | 2 | 15 | 3 | 50 | 8 | 10 |
| 22 | b | Helen Frenhines. | brwŷden. | 10 | yn | 00 | 3 | 00 | 3 | 49 | 8 | 11 |
| 23 | c | Wiliam. | y Cefen | 10 | | 30 | 3 | 45 | 3 | 48 | 8 | 12 |
| 24 | d | Dydd Jou derchaf. | a'r | 11 | | 00 | 4 | 20 | 3 | 47 | 8 | 13 |
| 25 | e | Urbanws. | galon. | 11 | | 30 | 4 | 15 | 3 | 46 | 8 | 14 |
| 26 | f | Edward. | y bol a'r | 12 | B | 02 | 5 | 00 | 3 | 45 | 8 | 15 |
| 27 | G | 6 Sul gwedi'r pasc. | perfedd. | 12 | machlŷd. | 33 | 5 | 45 | 3 | 45 | 8 | 15 |
| 28 | a | Jonas. | Cluniau, | 1 | | 00 | 6 | 36 | 3 | 44 | 8 | 16 |
| 29 | b | Gwyl y Brenin. | Cluniau, | 1 | | 30 | 7 | 13 | 3 | 43 | 8 | 17 |
| 30 | c | Wigand. | Cluniau. | 2 | | 00 | 8 | 20 | 3 | 42 | 8 | 18 |
| 31 | d | Petronel. | Arphed. | 2 | | 30 | 9 | 00 | 3 | 42 | 8 | 18 |

# MAI. 1688.

| | |
|---|---|
| Y | llawnlloned y 5 dŷdd, Rhwng 9 a 10 y boreu. |
| Lleuad | 3 chwarter oed y 12 dŷdd, ynghŷlch 7 o'r prŷdnawn. |
| ſydd | newidio y 19 dŷdd, ar ôl 4 y boreu. |
| yn | un chwarter oed y 26 dŷdd, Cŷn 11 o'r nôs. |

Y mîs hwn ſŷ'n gwahadd yr hwſwi Lwŷddiannus, a'r gwŷr penigamp, ( ſef y pyſygwŷr a'r pothecaris ) i oſod eu ſtiliau ar waith. Yn nechreu y mîs hwn heuwch a phlennwch bôb llyſiau hâf tyner, y rhain na ddygymmyddant ag oerdra'r hîn yn gŷnt o'r flwŷddŷn. Chwynnwch Erddi eich Hops, a thorwch bôb ofer ganghennau. Difwſoglwch eich Coed, a'ch gerddi: A chwŷnnwch eich ydau.

---

Codwch yn foreu, a rhodiwch y meuſŷdd a'r gerddi, a hynnŷ ar lan afon os Cewch y fâth gyfleuŷſtra, pôb gardd a gwrŷch yn y mîs hwn a waſanaetha am byſygwriaeth. Ymmenŷn mai, a ſage neu ſâeds ſŷdd enllŷn iachus ar foreu, A Glouw ſaidd ſummel ſŷdd well na gwîn; Cwrw yſgyrfi, A Bîr wermod ſŷ ddiod iachus. Bwŷtta ac yfed yn foreu ſŷ ddâ er mwŷn iechŷd. Ond pôb bwŷdŷdd a fônt wreſog eu naturiaeth, A phôb hâllt fwŷd ſŷdd afiachus yn y mîs hwn.

Y mîs hwn ſŷ fîs Carwriaeth, ac am hynnŷ Cynghorwn y gwŷr ifaingc i edrŷch attynt eu hŷnain, o blegŷd fôd y merched yn debŷg i ffidil a fae a phedwar o linynnau neu dannau iddi, yr rhain ydŷnt, gweddeidd-dra, Cywirdeb, hyſwiaeth, a morwŷndod; pan fô ar ffidil eiſiau un o'i phedwar tant ni thiwnnia hi yn hyfrŷd; Ac fellu am y merched, os bŷdd arnŷnt eiſeu un o'r pedwar priodolderau a henwŷd uchod, ni wnant fwŷ hyfrŷdwch i ŵr nag a wnae ffidil ddi dannau.

---

Diſgwilir tegwch ar ddechreu'r mîs hwn, ac ymbell gafod o wlaw tua'r Cauol, a thêg drachefen tua'r diwedd ac anwadal.

MEHEFIN.

# MEHEFIN. 1688.

| dyddiau'r mis. | dyddiau'r wŷthnos. | Y Dyddiau gwŷlion, a'r dyddiau hynod. | Yr Arwŷddion yng-horph dŷn, ac Enifail. | Codiad, a machludiad y lleuad. A. | | M. | pen llanw'r môr. A. | M | haul yn Codi A.M. | | haul yn machlud A. | M. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | e | Tegla. | Arphed | 3 | B | 00 | 10 | 0 | 3 | 42 | 8 | 18 |
| 2 | f | Gwŷfen. | morddwŷd, | 3 | m. | 30 | 11 | 0 | 3 | 42 | 8 | 18 |
| 3 | G | y Sul Gwyn. | morddwŷd. | | | | 12 | 0 | 3 | 42 | 8 | 18 |
| 4 | a | Hedrog. | gliniau, | 8 | N | 30 | 12 | 55 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 5 | b | Nichodemus, | a | 9 | | 0 | 1 | 50 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 6 | c | Narbert. | garrau. | 9 | lleuad yn Codi. | 30 | 2 | 45 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 7 | d | Paul. | Coesau, | 10 | | 0 | 3 | 40 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 8 | e | Wiliam Esgob. | Coesau, | 10 | | 30 | 4 | 35 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 9 | f | Barnim. | Traed, | 11 | | 16 | 5 | 30 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 10 | G | Sul y Drindod. | Traed. | 11 | | 50 | 6 | 25 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 11 | a | St. Barnab. y dŷdd | pen ac | 12 | B | 20 | 7 | 20 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 12 | b | Blandin. (hwŷaf. | wŷneb. | 12 | | 40 | 8 | 15 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 13 | c | Sannan. | gwddwf, | 1 | | 10 | 9 | 10 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 14 | d | Valerius. | gwddwf. | 1 | | 40 | 10 | 05 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 15 | e | Trillo. | ysgwŷdd. | 2 | | 10 | 11 | 3 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 16 | f | Elidan, Curig. | breichiau. | 3 | | 0 | 12 | 0 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 17 | G | 1 Sul gwedi'r drin. | bronnau, | | | | 12 | 48 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 18 | a | Homer. | bronnau, | 8 | N | 30 | 1 | 36 | 3 | 41 | 8 | 19 |
| 19 | b | Leuard. | bronnau. | 9 | | 0 | 2 | 24 | 3 | 42 | 8 | 18 |
| 20 | c | Regina. | Cefen, | 9 | lleuad yn machlud. | 30 | 3 | 12 | 3 | 42 | 8 | 18 |
| 21 | d | Alban. | Calon. | 10 | | 0 | 4 | 0 | 3 | 42 | 8 | 18 |
| 22 | e | Gwen frewi. | y bol a'r | 10 | | 30 | 4 | 48 | 3 | 43 | 8 | 17 |
| 23 | f | Basilius. | perfedd. | 10 | | 56 | 5 | 36 | 3 | 43 | 8 | 17 |
| 24 | G | Gwyl St. Joan fed. | Cluniau, | 11 | | 10 | 6 | 24 | 3 | 44 | 8 | 16 |
| 25 | a | Elogius. | Clunniau, | 11 | | 36 | 7 | 12 | 3 | 45 | 8 | 15 |
| 26 | b | Tyrnog, Twrog. | Clunniau. | 12 | B | 6 | 8 | 0 | 3 | 46 | 8 | 14 |
| 27 | c | y 7 Cyscaduriaid. | Arphed | 12 | | 50 | 8 | 48 | 3 | 47 | 8 | 1[illegible] |
| 28 | d | Leo. | dirgelwch. | 1 | | 20 | 9 | 36 | 3 | 48 | 8 | 12 |
| 29 | e | Gwyl S. Pet. a Paul | morddwŷd, | 1 | | 50 | 10 | 24 | 3 | 49 | 8 | 11 |
| 30 | f | Ymchwel Paul. | morddwŷd. | 2 | | 45 | 11 | 12 | 3 | 50 | 8 | 10 |

